Adael ar y trafodaethau a llwyddiant yn eu ffurfio o fewn agendâu newyddion bod ymyrraeth o'r fath wedi cael ei hystyried yn angenrheidiol yn Media Wales.

Er y gallai pwysau ffeithiol y ddadl ymddangos fel pe bai yn amlwg dros Aros yn y drafodaeth newyddion (yn gyffredinol, roedd gadael yr UE yn llawer mwy cysylltiedig yn gyffredinol â thlodi yn y sylw economeg a gwleidyddiaeth (n=162) nag aros (n=31)), nid yw hyn yn golygu, yn emosiynol, bod grym a chyfeiriad y drafodaeth mor syml. Er bod iaith gynhyrfiol yn nodwedd o newyddion yn ymwneud â dwy ochr y drafodaeth, roedd camau Gadael i gyd-fynd â'r grwpiau cymdeithasol mwyaf agored i niwed, wedi'u difreinio, yn apelio'n llawer mwy at deimladau gelyniaethus, yn cynnwys poen, rhwystredigaeth a sarhad sydd yn gysylltiedig ag anghyfiawnderau'r status quo. Roedd y teimladau hyn yn erbyn yr 'elît' ac arbenigwyr oedd yn gysylltiedig ag Aros. Roedd cyfeiriad emosiynol y drafodaeth yn arbennig o amlwg yn yr wythnos cyn y bleidlais, gyda thystiolaeth bersonol, llythyrau a safbwyntiau yn cynnwys amrywiaeth o bleon terfynol i bleidleiswyr. Mae pryder a braw yn ymwneud â bywoliaeth yn amlwg iawn yn y sylw hwn, ynghyd â dicter tuag at wrthwynebwyr yr ymgyrch a phryderon sydd yn gysylltiedig â chanlyniad y bleidlais. Mewn llythyr ar 16 Mehefin i'r *Daily Post*, er enghraifft, mae Dave Haskell o Aberteifi yn datgan 'Am Brif Weinidog dauwynebog, ffiaidd yw David Cameron – mae bellach yn ceisio dychryn yr henoed am eu pensiynau os na fyddant yn pleidleisio i aros yn yr UE – beth nesaf, ymosodiad ar yr anabl?' Mewn gwrthgyferbyniad, mae darn yn *Wales Online* ar 15 Mehefin, sydd yn ceisio, yn rhy daer efallai, i ysgogi a chysylltu ymdeimlad cenedlaetholgar â theyrngarwch i'r UE, yn cymharu 'aros' â llwyddiant tîm pêl-droed dynion Cymru yn nhwrnamaint pêl-droed UEFA yn 2016:

> Bydd Gareth Bale a'r criw yn gwneud popeth o fewn eu gallu i osgoi 'WEXIT' yfory, a byddwn i gyd yn eu cefnogi. Mae gwleidyddiaeth – wrth gwrs – ychydig yn fwy cymhleth. Ond byddai pleidleisio i adael yr UE ddydd Iau nesaf yn fwy dinistriol fyth i hunaniaeth a balchder Cymreig na chael ein taflu allan o'r Ewros. (Cyn-brif ohebydd gwleidyddol y BBC a chyfarwyddwr cyfathrebu Boris Johnson, Guto Harri)

Yn ystod wythnos olaf yr ymgyrch, gwelwyd hefyd ymddangosiad poster 'Breaking Point' UKIP, sydd bellach yn enwog, yn dangos llinell hir o ffoaduriaid ynghyd â'r geiriau, 'Mae'r UE wedi ein siomi i gyd. Mae'n rhaid i ni dorri'n rhydd o'r UE a chael rheolaeth unwaith eto dros ein ffiniau'. Mae darn yn *Wales Online*, 'Farage o Dan y Lach Ond yn Ddiedifar am y Poster Mudwyr' (16 Mehefin), yn cynnwys honiad Farage bod ymateb yr UE i'r argyfwng mudwyr 'wedi gwneud gwall sylfaenol sydd yn peryglu diogelwch pawb', yn ogystal â gwrthwynebu 'ffieidd-dod' (Nicola Sturgeon) ac 'ofnau' (AC Llafur Mick Antoniw) gwleidyddion am effaith ymfflamychol rhethreg oedd yn gwrthwynebu mewnfudo i'r fath raddau, yn 'bwydo "man gwan cynyddol, hyll" o hiliaeth yng Nghymru'. Gwelwyd pryderon hefyd yn y newyddion mewn ffyrdd llai gelyniaethus, mewn ymdrechion i ddwyn perswâd yn hytrach nag

atgyfnerthu sefyllfaoedd presennol. Er enghraifft, yn 'Pam Rwy'n Pleidleisio Dros Aros ar 23 Mehefin, gan yr Entrepreneur Cymdeithasol a Greodd 150 o Swyddi yn y Cymoedd' (*Wales Online*, 16 Mehefin), mae Patrick Nash yn cyflwyno'r achos dros barhau yn aelod o'r UE, gan fabwysiadu tôn empathetig tuag at y rheiny sydd yn cydymdeimlo â phobl sydd o blaid gadael:

> Postiais fy mhleidlais ar gyfer Refferendwm yr UE dros y penwythnos. Pleidleisiais dros Aros, ond eto rwy'n teimlo'n bryderus nad yw hyn yn ddigon … Sgwn i faint o bobl sydd yn sylweddoli mai'r UE sydd i ddiolch am eu swyddi a'u bywoliaeth yn y rhan yma o'r byd? … Rhwygwyd calon fy nhref agosaf i allan flynyddoedd lawer yn ôl ac mae wedi cael anhawster mawr yn dod dros hynny yn economaidd. A yw hynny'n golygu bod llawer o bobl yn teimlo'n ddig? Wrth gwrs ei fod ac mae hynny'n iawn. Nid yw negeseuon am economi sydd ar gynnydd yn golygu dim pan fydd eich tref neu eich cymuned chi yn dioddef.

Wrth edrych yn agosach ar y ffordd y mae darnau newyddion a gyhoeddwyd ar ôl y bleidlais wedi eu gosod, ceir ystod o adlewyrchiadau sydd yn ceisio deall y canlyniad a'i effaith bosibl ar fywoliaeth. Yn 'Dyma'r Ffordd y Mae Pobl y Cymoedd yn Teimlo ar ôl Pleidleisio i Adael yr UE' (*Wales Online*, 28 Mehefin), er enghraifft, mae ansicrwydd difrifol a phryder yn ymwneud â challineb penderfyniadau pleidleisio yn amlwg, wedi eu gosod fel pryder y gellir ei gyfiawnhau. Mae dyfyniadau gan 'bleidleiswyr dros Adael', er enghraifft: 'Nid ydym yn gwybod beth fydd yn digwydd yn y dyfodol ac rwy'n poeni nawr am bethau'n mynd o'i le', yn ymddangos ar y cyd â rhai 'pleidleiswyr dros Aros': 'Gan ein bod bellach allan mae llawer o bobl yn mynd i banig. Nid oeddwn yn disgwyl i bobl bleidleisio dros Adael. Rydym wedi cael llawer o gymorth yma. Ni fydd San Steffan yn rhoi arian i ni ac mae gennyf fwy o ffydd ym Mrwsel na San Steffan i roi yn ôl i Gymru.'

Mewn erthyglau eraill, mae dicter a siom am y canlyniad yn cael ei fynegi'n glir, hyd yn oed os yw wedi ei gynnwys ar y cyd ag addewid y dylid ei gynnal. Yn 'Mae'n Rhaid i Ni Anrhydeddu Pleidlais Brexit: Nawr Dewch i Ni Edrych ar y Print Mân', er enghraifft, mae Dafydd Wigley yn dadlau:

> Mae Prydain yn dlotach heddiw nag ydoedd ddydd Iau diwethaf. Cwympodd y bunt, cafodd biliynau eu dileu o gronfeydd pensiwn a chafodd cyfraddau credyd Prydain eu torri. Mae sefydliadau ariannol yn symud swyddi dramor; mae prosiectau diwydiannol wedi eu hatal dros dro. Roedd yn hawdd rhagweld hyn – ac fe wnaed hynny. Cafodd rhybuddion o'r fath – gan 'arbenigwyr' – eu gwrthod. Roedd yn well gan rai pobl asesiad economaidd Joe Bloggs yn y dafarn leol nag asesiadau dadansoddwyr economaidd rhyngwladol. Mae hyn wedi dod yn ôl ar ein pennau. Pobl gyffredin sy'n gweithio – yn arbennig yr ifanc sydd yn chwilio swyddi a chartrefi – fydd yn talu'r pris. (*Daily Post*, 30 Mehefin)

Yn 'A yw Ffasgiaeth yn Ôl yn Llechu ar ein Strydoedd' (*Western Mail*, 1 Gorffennaf), er enghraifft, mae awdur y llythyr, Gillian Barrar, yn sôn am ei chywilydd ar y canlyniad:

> Rydym wedi bradychu ein pobl ifanc, sydd yn wynebu byd caled, cystadleuol. Nhw sy'n cario baich y ddyled heb y buddion oedd gan fy nghenhedlaeth i. Ni, sydd wedi cael addysg a gofal iechyd am ddim a buddion eithaf gweddus. Gweithiodd ein rhieni ac aberthu er mwyn sicrhau'r buddion hyn i ni. Ariannwyd ein prifysgol gan 'geiniogau'r tlawd'. Adeiladodd Aneurin Bevan ar waith diflino pwyllgorau gwirfoddol ac ymdrechion ymroddedig grwpiau Lles Glowyr i gyflwyno'r GIG … Bellach mae plant y genhedlaeth honno, a ddylai wybod yn well, trwy hunanoldeb a hunan-fudd cul, wedi syrthio i fagl beryglus dwli Farage a'i griw.

Roedd lleisiau buddugoliaethus neu hyderus, yn sicrhau cynulleidfaoedd newyddion y byddai'r penderfyniad i adael yr UE yn dod â budd economaidd i Gymru neu effaith gadarnhaol ar fywoliaeth pobl gyffredin, yn llawer llai amlwg yn y sylw ar ôl y bleidlais.

## Materion a phrofiadau o dlodi

Ar draws ein sampl, edrychwyd ar y materion penodol y soniwyd amdanynt yn ymwneud â thlodi, yn ogystal â'r materion y nodwyd bod pobl yn yr erthygl wedi eu profi'n uniongyrchol. Trwy archwilio tlodi o'r ddau safbwynt ychydig yn wahanol, ein nod oedd canolbwyntio ar y graddau y gellir personoli neu adrodd yn fwy haniaethol ar faterion penodol yn y sylw.

Wrth archwilio'r sylw, rydym yn gweld amrywiaeth o faterion yn gysylltiedig â thlodi. Yn gyffredinol, cofnodwyd 4,117 o faterion ar draws y 1,498 o eitemau newyddion yn ein sampl. Y mater a nodwyd amlaf o bell oedd diweithdra/swyddi – yn bresennol mewn 47.3% o'r holl eitemau newyddion (n=708), wedi ei ddilyn gan doriadau i gyllid cymdeithasol/lles (24.3%, n=364) ac economi/isadeiledd gwael (20.6%, n=308).

Pan fyddwn yn edrych ar y materion a nodir fel profiadau pobl, mae'r darlun ychydig yn wahanol gydag ystod fwy cyfyng o faterion penodol yn cael eu cynrychioli a'r categori mwyaf arwyddocaol ar draws y mathau o gyfryngau yw 'profi tlodi/allgáu cymdeithasol' yn gyffredinol (n=460, 30.7% o eitemau newyddion). Fodd bynnag, o ran pethau eraill, mae'r profiadau a nodwyd yn adlewyrchu'r materion yn ymwneud â thlodi a nodir yn Nhabl 7 uchod, gydag ansicrwydd cyflogaeth (28.9%, n=433) a diweithdra (28.3%, n=424) yn elfen gref ar draws y cyfryngau, ynghyd â phroblemau neu anawsterau yn cael mynediad at fudd-daliadau a gwasanaethau (22.9% o eitemau newyddion, n=343), oedd yn cynnwys problemau yn gysylltiedig â newidiadau i fudd-daliadau a thoriadau i gyllid cymdeithasol/lles yn fwy cyffredinol.

**Tabl 7:** Materion yn ymwneud â thlodi oedd wedi eu cynnwys yn y sylw (fel % o'r eitemau newyddion).

| | **Teledu** | **Radio** | **Print** | **Ar-lein** | **Pob cyfrwng** |
|---|---|---|---|---|---|
| Diweithdra/swyddi | 51.9% (n=140) | 40.9% (n=117) | 44.7% (n=185) | 50.4% (n=266) | 47.3% (n=708) |
| Toriadau cyllid cymdeithasol/lles | 23.3% (n=63) | 23.4% (n=67) | 22.5% (n=93) | 26.7% (n=141) | 24.3% (n=364) |
| Economi/isadeiledd gwael | 27% (n=73) | 25.9% (n=74) | 12.3% (n=51) | 20.8% (n=110) | 20.6% (n=308) |
| Tlodi ac amddifadedd | 7.4% (n=20) | 17.1% (n=49) | 24.2% (n=100) | 13.3% (n=70) | 16% (n=239) |
| Costau byw (cyffredinol) | 11.5% (n=31) | 22% (n=63) | 10.1% (n=42) | 12.1% (n=64) | 13.4% (n=200) |
| Cyflogau isel | 10% (n=27) | 14.3% (n=41) | 14.5% (n=60) | 11% (n=58) | 12.4% (n=186) |
| Problemau addysg | 13.3% (n=36) | 14.7% (n=42) | 5.8% (n=24) | 15.9% (n=84) | 12.4% (n=186) |
| Pensiynau | 7.8% (n=21) | 7.3% (n=21) | 20% (n=83) | 8.9% (n=47) | 11.5% (n=172) |
| Anghydraddoldeb | 10% (n=27) | 8.4% (n=24) | 19.3% (n=80) | 7% (n=37) | 11.2% (n=168) |
| Mynediad at fudd-daliadau | 8.5% (n=23) | 12.9% (n=37) | 10.6% (n=44) | 8.7% (n=46) | 10% (n=150) |
| Tlodi plant | 5.9% (n=16) | 10.5% (n=30) | 9.2% (n=38) | 12.1% (n=64) | 9.9% (n=148) |
| Problemau iechyd | 9.3% (n=25) | 13.6% (n=39) | 8.5% (n=35) | 9.3% (n=49) | 9.9% (n=148) |
| Problemau tai | 5.9% (n=16) | 6.6% (n=19) | 11.8% (n=49) | 11.6% (n=61) | 9.7% (n=145) |
| Digartrefedd | 5.2% (n=14) | 4.5% (n=13) | 12.6% (n=52) | 6.8% (n=36) | 7.7% (n=115) |
| Tlodi gwledig | 11.5% (n=31) | 17.1% (n=49) | 2.9% (n=12) | 4.2% (n=22) | 7.6% (n=114) |
| Arall | 2.6% (n=7) | 5.2% (n=15) | 5.6% (n=23) | 12.7% (n=67) | 7.5% (n=112) |
| Tangyflogaeth | 7% (n=19) | 10.5% (n=30) | 6.5% (n=27) | 5.9% (n=31) | 7.1% (n=107) |
| Dyledion | 4.4% (n=12) | 7.7% (n=22) | 7% (n=29) | 6.1% (n=32) | 6.3% (n=95) |

*parh.*

**Tabl 7:** *parh.*

| | Teledu | Radio | Print | Ar-lein | Pob cyfrwng |
|---|---|---|---|---|---|
| Cost trafnidiaeth | 7% (n=19) | 7% (n=20) | 3.6% (n=15) | 7% (n=37) | 6.1% (n=91) |
| Newyn | 4.4% (n=8) | 8.7% (n=25) | 4.3% (n=18) | 4.7% (n=25) | 5.1% (n=76) |
| Biliau'r cartref | 7% (n=6) | 25.2% (n=15) | 5.3% (n=22) | 5.1% (n=27) | 4.7% (n=70) |
| Lefelau budd-daliadau | 4.4% (n=13) | 2.1% (n=6) | 7% (n=29) | 3.4% (n=18) | 4.4% (n=66) |
| Mynediad at gredyd | 7% (n=10) | 5.6% (n=16) | 0.2% (n=1) | 1.9% (n=10) | 2.5% (n=37) |
| Cost gofal plant | 1.9% (n=5) | 3.8% (n=11) | 2.7% (n=11) | 1.9% (n=10) | 2.5% (n=37) |
| Lefelau rhent | 1.9% (n=5) | 2.4% (n=7) | 1.2% (n=5) | 2.7% (n=14) | 2.1% (n=31) |
| Banciau bwyd | 0.7% (n=2) | 2.8% (n=8) | 3.4% (n=14) | 0.8% (n=4) | 1.9% (n=28) |
| Llafur gorfodol /caethwasiaeth | 1.1% (n=3) | 0% (n=0) | 1.2% (n=5) | 0.8% (n=4) | 0.8% (n=12) |
| Dim mater penodol wedi ei nodi | 0.7% (n=2) | 0% (n=0) | 0.2% (n=1) | 0.2% (n=1) | 0.3% (n=4) |
| Cyfanswm | (n=674) | (n=860) | (n=1,148) | (n=1,435) | (n=4,117) |

**Tabl 8:** Profiadau tlodi ar draws y cyfryngau (fel % o eitemau newyddion).

| | Teledu | Radio | Print | Ar-lein | Pob cyfrwng |
|---|---|---|---|---|---|
| Tlodi/allgáu cymdeithasol (yn gyffredinol) | 15.2% (n=41) | 32.2% (n=92) | 30.9% (n=128) | 37.7% (n=199) | 30.7% (n=460) |
| Ansicrwydd cyflogaeth | 34.8% (n=94) | 28% (n=80) | 22.7% (n=94) | 31.3% (n=165) | 28.9% (n=433) |
| Diweithdra | 27.8% (n=75) | 21% (n=60) | 26.3% (n=109) | 34.1% (n=180) | 28.3% (n=424) |
| Mynediad at fudd-daliadau a gwasanaethau | 26.3% (n=71) | 31.1% (n=89) | 22.9% (n=95) | 16.7% (n=88) | 22.9% (n=343) |

**Tabl 8:** *parh.*

| | **Teledu** | **Radio** | **Print** | **Ar-lein** | **Pob cyfrwng** |
|---|---|---|---|---|---|
| Iechyd (meddwl/ corfforol) | 10.7% (n=29) | 8.7% (n=25) | 14% (n=58) | 16.1% (n=85) | 13.2% (n=197) |
| Dim profiadau wedi eu cynnwys | 15.9% (n=43) | 8% (n=23) | 14.3% (n=59) | 8.7% (n=46) | 11.4% (n=171) |
| Arall | 4.8% (n=13) | 7.7% (n=22) | 8.9% (n=37) | 15% (n=79) | 10.1% (n=151) |
| Cyflogau isel | 7% (n=19) | 7.7% (n=22) | 12.1% (n=50) | 9.7% (n=51) | 9.5% (n=142) |
| Ansicrwydd pensiynau | 5.9% (n=16) | 4.2% (n=12) | 13% (n=54) | 6.1% (n=32) | 7.6% (n=114) |
| Digartrefedd | 2.6% (n=7) | 5.2% (n=15) | 11.8% (n=49) | 5.5% (n=29) | 6.7% (n=100) |
| Tangyflogaeth | 5.2% (n=14) | 3.5% (n=10) | 2.7% (n=11) | 2.3% (n=12) | 3.1% (n=47) |
| Cyfanswm | 156.3% (n=422) | 157.3% (n=450) | 179.7% (n=744) | 183% (n=966) | 172.4%[1] (n=2,582) |

Er bod amlder mathau gwahanol o brofiadau o dlodi yn weddol gyson ar draws y mathau o gyfryngau, roedd rhai categorïau profiad yn gryfach mewn rhai adrannau o'r cyfryngau nag eraill. Er enghraifft, er nad oedd digartrefedd yn ymddangos mor aml fel profiad cyffredinol, roedd yn ymddangos yn llawer mwy aml mewn print (11.8% o eitemau newyddion, n=49) na'r cyfryngau darlledu (teledu: 2.6% o eitemau newyddion, n=7; radio: 5.2% o eitemau newyddion, n=15) neu ar-lein (5.5% o eitemau newyddion, n=29). Yn 11.4% o eitemau newyddion yn gyffredinol (n=171), ni chafwyd unrhyw gyfeiriadau pendant at brofiadau o dlodi o gwbl, sy'n awgrymu ffurf mwy haniaethol neu wedi ei dadbersonoli o sylw i'r materion. Roedd hyn yn fwy tebygol mewn newyddion ar y teledu (15.9%, n=43) a phrint (14.3%, n=59) na newyddion ar y radio (8%, n=23) neu ar-lein (8.7%, n=46).

## Achosion a chanlyniadau tlodi

Er mwyn archwilio'r fframwaith adrodd ar dlodi a materion cysylltiedig, dadansoddwyd pa achosion neu resymau, os o gwbl, oedd yn gysylltiedig â thlodi a'i faterion cysylltiedig yn y sylw. Yn 27.3% o'r eitemau newyddion (n=409) ni soniwyd am unrhyw achosion o gwbl.

**Tabl 9:** Achosion o faterion yn ymwneud â thlodi yn ôl math o gyfrwng (fel % o eitemau newyddion).

| | Teledu | Radio | Print | Ar-lein | Pob cyfrwng |
|---|---|---|---|---|---|
| Dim achosion wedi eu cynnwys | 28.9% (n=78) | 21% (n=60) | 28.3% (n=117) | 29.2% (n=154) | 27.3% (n=409) |
| Strwythurol | 18.1% (n=49) | 21% (n=60) | 19.8% (n=82) | 19.1% (n=101) | 19.5% (n=292) |
| Economi Cymru/ dad-ddiwydiannu | 16.3% (n=44) | 19.9% (n=57) | 11.8% (n=49) | 18.9% (n=100) | 16.7% (n=250) |
| Pleidleisio dros adael yr UE/Brexit | 14.1% (n=38) | 12.2% (n=35) | 15% (n=62) | 15.7% (n=83) | 14.6% (n=218) |
| Toriadau cyllid/mesurau cyni[2] | 15.2% (n=41) | 13.6% (n=39) | 8.9% (n=37) | 12.5% (n=66) | 12.2% (n=183) |
| Arferion busnes/ gweithredoedd corfforaethau | 10.7% (n=29) | 11.5% (n=33) | 14.3% (n=59) | 7.6% (n=40) | 10.7% (n=161) |
| Globaleiddio | 9.3% (n=25) | 8.7% (n=25) | 8.2% (n=34) | 9.7% (n=51) | 9% (n=135) |
| Unigol | 4.1% (n=11) | 5.2% (n=15) | 7.7% (n=32) | 7.8% (n=41) | 6.6% (n=99) |
| Tsieina/India | 3% (n=8) | 3.8% (n=11) | 5.8% (n=24) | 5.7% (n=30) | 4.9% (n=73) |
| Costau tanwydd/ynni | 5.2% (n=14) | 3.5% (n=10) | 5.1% (n=21) | 4.4% (n=23) | 4.5% (n=68) |
| Arall | 3.3% (n=9) | 3.5% (n=10) | 4.8% (n=20) | 4.7% (n=25) | 4.3% (n=64) |
| Pleidleisio dros aros yn yr UE/aelodaeth o'r UE | 4.8% (n=13) | 2.4% (n=7) | 4.8% (n=20) | 4.2% (n=22) | 4.1% (n=62) |
| Trafnidiaeth | 3.3% (n=9) | 4.9% (n=14) | 1.4% (n=6) | 1.9% (n=10) | 2.6% (n=39) |
| Dibyniaeth ar sylweddau | 0.4% (n=1) | 0% (n=0) | 4.6% (n=19) | 2.1% (n=11) | 2.1% (n=31) |
| Rhyfel neu wrthdaro | 0.7% (n=2) | 3.1% (n=9) | 2.4% (n=10) | 0% (n=0) | 1.4% (n=21) |
| Bod heb waith[3] | 0.4% (n=1) | 0% (n=0) | 0.5% (n=2) | 0.4% (n=2) | 0.3% (n=5) |
| Cyfanswm | 137.8% (n=372) | 134.6% (n=385) | 143.5% (n=594) | 143.8% (n=759) | 140.9% (n=2,110) |




**Ffigur 4:** Achosion tlodi o Ebrill i Orffennaf 2016 (fel % o'r holl sylw yn y cyfryngau).

Fodd bynnag, yn y 72.7% (n=1,089) o'r eitemau newyddion oedd yn awgrymu neu'n cynnwys achosion yn bendant, achosion strwythurol[4] neu facro-economaidd a nodwyd fwyaf fel achos tlodi.

Gallwn ddweud bod llawer mwy o bwyslais yn y sylw ar achosion strwythurol (27.3% o eitemau newyddion, n=292) a phroblemau'n gysylltiedig ag economi/dad-ddiwydiannu Cymru fel ffactorau achosol tlodi (16.7% o eitemau newyddion, n=250) nag ar ymddygiad yr unigolion a gynrychiolwyd fel achos eu tlodi eu hunain (6.6% o eitemau newyddion, n=99) neu normau diwylliannol penodol 'bod heb waith' yn awgrymu diffyg moeseg gwaith ymysg y tlawd (0.3% o eitemau newyddion, n=5). Yn wir, ni welsom lawer o dystiolaeth, os o gwbl, o bobl sydd yn profi tlodi yn cael eu cyfleu mewn ffordd oedd yn stereoteipio neu'n creu stigma amlwg yn ystod ein cyfnod monitro.

Er nad yw ein sampl yn cynrychioli'r holl sylw yn y newyddion i Brexit yng Nghymru yn ystod y cyfnodau gafodd eu monitro, mae'n cyfleu'r holl sylw yn ymwneud â thlodi, anghydraddoldeb economaidd a thrafod effeithiau posibl canlyniad y refferendwm ar ffordd o fyw ac amddifadedd cymdeithasol yng Nghymru. Fel y sylw yn fwy cyffredinol, er y gallai materion sy'n berthnasol neu'n bosibl yn achosion tlodi fod wedi bod yn ymhlyg yn y naratif newyddion, nid nad oeddent bob amser wedi cael eu cyfleu felly (er, fel yr archwiliwyd uchod, roedd yna eithriadau nodedig). Mewn geiriau eraill, mae'r data yn awgrymu nad oedd cwestiynau strwythurol neu economaidd cymhleth a dadleuol (fel canlyniadau Brexit neu dim Brexit) yn amlwg gysylltiedig â'r hyn y gallent eu golygu, yn gadarn, yn realaeth bywydau bob dydd pobl.

Pan gafodd cyfeiriadau at aelodaeth o'r UE a phenderfyniadau pleidleisio'r refferendwm eu nodi, roedd 'pleidleisio dros adael yr UE/Brexit' (14.6% o eitemau newyddion, n=218) ac aelodaeth o'r UE yn y gorffennol neu'r presennol a/neu 'bleidleisio dros aros yn yr UE/aelodaeth o'r UE' (4.1% o eitemau newyddion, n=62) naill ai yn achos ansicrwydd presennol, amddifadedd/ffordd o fyw gwaeth posibl yn y dyfodol neu'n atal ffyniant – sefyllfaoedd pegynol a gyflwynwyd yn bennaf i'r sylw gan ffynonellau ar y ddwy ochr o ymgyrch y refferendwm. Fodd bynnag, er i amlder cynrychiolaeth 'gadael' ac 'aros' fel achosion tlodi gynyddu yn ystod wythnosau ymgyrch y refferendwm ym Mai a Mehefin, cynyddodd 'Pleidleisio dros adael yr UE/Brexit' lawer mwy, gan barhau yn syth ar ôl y bleidlais a chyrraedd uchafbwynt yn ystod Cyfnod Codio 7 (40.5% o eitemau newyddion, n=68), cyn lleihau ym mis Gorffennaf.

Cyrhaeddodd cyfleu 'pleidleisio dros aros/aelodaeth o'r UE' fel achos posibl tlodi, mewn cymhariaeth, anterth llawer llai, ond arwyddocaol, yng Nghyfnod Codio 6 – cyn pleidlais y refferendwm (10.9% o eitemau newyddion, n=23). Efallai nad yw'n syndod bod y sylw i bryderon yn ymwneud â thlodi oedd yn

**Tabl 10:** Canlyniadau tlodi ar draws y cyfryngau[5] (fel % o'r eitemau newyddion).

| | **Teledu** | **Radio** | **Print** | **Ar-lein** | **Pob cyfrwng** |
|---|---|---|---|---|---|
| Dim canlyniadau wedi eu cynnwys | 48.9% (n=132) | 29% (n=83) | 38.4% (n=159) | 24.6% (n=130) | 33.6% (n=504) |
| Cymunedau'n dioddef | 27.4% (n=74) | 33.6% (n=96) | 23.7% (n=98) | 41.1% (n=217) | 32.4% (n=485) |
| Incwm isel cartrefi | 10.4% (n=28) | 20.6% (n=59) | 19.6% (n=81) | 18.9% (n=100) | 17.9% (n=268) |
| Allgáu cymdeithasol[6] | 12.6% (n=34) | 21.3% (n=61) | 14.7% (n=61) | 18.2% (n=96) | 16.8% (n=252) |
| Anghydraddoldeb cymdeithasol/economaidd | 5.9% (n=16) | 16.4% (n=47) | 13.5% (n=56) | 20.8% (n=110) | 15.3% (n=229) |
| Problemau iechyd | 9.6% (n=26) | 9.8% (n=28) | 18.6% (n=77) | 16.3% (n=86) | 14.5% (n=217) |
| Plant/teuluoedd yn dioddef | 9.3% (n=25) | 10.5% (n=30) | 11.6% (n=48) | 15.9% (n=84) | 12.5% (n=187) |
| Problemau addysgol | 6.7% (n=18) | 3.5% (n=10) | 4.3% (n=18) | 8.7% (n=46) | 6.1% (n=92) |
| Arall | 1.1% (n=3) | 1.4% (n=4) | 4.6% (n=19) | 4.5% (n=24) | 3.3% (n=50) |
| Cyfanswm | 131.9% (n=356) | 146.2% (n=418) | 149% (n=617) | 169.1% (n=893) | 152.5% (n=2,284) |

gysylltiedig â Brexit yn y newyddion yng Nghymru yn llawer mwy na'r sylw a roddwyd i bryderon oedd yn gysylltiedig ag aros, gan fod Cymru wedi bod yn fuddiolwr net cyllid yr UE dros y blynyddoedd diweddar. Ar y llaw arall, oherwydd canlyniad y bleidlais yng Nghymru, gallai ymddangos fel na bai'r agwedd hon ar y sylw yn cyd-fynd â safbwynt y cyhoedd. Fodd bynnag, yn fwyaf nodedig, mae'n amlwg na wnaeth llawer o sylw am dlodi yn cynnwys achosion yn ymwneud â mater aelodaeth o'r UE ymddangos o gwbl hyd at gyfnod monitro 4 – hanner olaf Mai ac ymhell i mewn i'r ymgyrch ei hun. Mae hyn yn dangos na wnaeth fframwaith naratif cadarn o ddealltwriaeth am dlodi a'r effeithiau posibl ar ffordd o fyw yn sgil Brexit neu ddim Brexit ddatblygu o bosibl yn y misoedd cyn y bleidlais. Yn lle hynny, cafodd y naratif newyddion ar aelodaeth o'r UE vs Brexit mewn perthynas â thlodi ei gyfleu'n fwy trwy sylw dwys i'r materion yn ystod cyfnod cymharol fyr o wythnosau cyn y bleidlais.

Er mwyn ystyried ymhellach sut cafodd y sylw ei gyfleu, archwiliwyd hefyd pa ganlyniadau, os o gwbl, a nodwyd o ganlyniad i dlodi. Mewn geiriau eraill sut, os o gwbl, y gwnaeth effeithiau tlodi ar unigolion, eu cymunedau neu'r gymdeithas ehangach gael eu cynnwys mewn straeon newyddion?

Ni wnaeth 33.6% o'r eitemau newyddion (n=504) sôn yn uniongyrchol na thalu sylw i unrhyw ganlyniadau tlodi, sy'n golygu na wnaeth goblygiadau tlodi na'r profiadau yn ei sgil i unigolion, eu cymunedau neu'r gymdeithas ehangach gael eu cynnwys yn benodol neu gael eu hawgrymu yn y naratif.

Yn y 66.4% o eitemau newyddion (n=995) oedd yn cynnwys cyfeiriadau at ganlyniadau tlodi, nodwyd materion cymdeithasol cyffredinol a materion mwy lleol neu wedi eu hunigoli. Y canlyniad a nodwyd amlaf oedd y syniad eang bod cymunedau'n dioddef (32.4%, n=485). Roedd hyn yn cynnwys sylw lle'r oedd colledion swyddi mewn ardal yn cael ei gyfleu o ran sut y gallai'r gymuned neu'r rhanbarth gael ei effeithio, er enghraifft, yr effeithiau niweidiol ar yr ardal gyfan wrth i gwmni bysiau yn sir y Fflint fynd i ddwylo'r gweinyddwyr, neu pan oedd pryder y byddai'r bygythiad neu golli swyddi gwirioneddol yn effeithio ar ragolygon y gymuned gyfan (e.e., mewn rhai straeon am 'Gylchffordd Cymru' ac argyfwng Tata Steel). Roedd incwm isel cartrefi hefyd yn amlwg ar draws y sylw (nodwyd 17.9% o achosion, n=268), yn yr un modd ag anghydraddoldeb cymdeithasol/economaidd (15.3%, n=229).

Mae'n werth nodi bod rhywfaint o'r 16.8% (n=252) o'r sylw yn ymwneud naill ai ag 'allgáu cymdeithasol' neu syniadau am 'gyfleoedd' a 'chyfleoedd bywyd' wedi cael eu cyflwyno i'r sylw gan ffigurau gwleidyddol (er enghraifft, mewn straeon am ymgyrch Stephen Crabbe am arweinyddiaeth y Ceidwadwyr, safbwyntiau yn cysylltu ei gefndir economaidd-cymdeithasol personol â'i safbwyntiau polisi, esboniadau Jeremy Corbyn o'i safbwyntiau polisi ar anfantais economaidd-gymdeithasol wrth amddiffyn ei arweinyddiaeth a phwyntiau a wnaed am adlewyrchiadau Theresa May ar ganlyniadau tlodi yn ei haraith gyntaf fel prif weinidog). Ar wahân i enghreifftiau â phroffil mor uchel, ni chafwyd llawer o straeon yn dangos canlyniadau tlodi i unigolion penodol, er enghraifft trwy gyfweliadau neu astudiaethau achos mwy manwl, yn y sylw.

## Cyfrifoldeb am dlodi

Archwiliwyd y ffordd, os o gwbl, yr oedd cyfrifoldeb am dlodi'n cael ei gynrychioli, naill ai'n uniongyrchol neu'n cael ei awgrymu'n glir yn y sylw. Yn 26.4% o'r eitemau newyddion (n=396) ni awgrymwyd na neilltuo unrhyw gyfrifoldeb o gwbl am dlodi. Roedd hyn ar ei uchaf mewn newyddion print (31.2% o erthyglau, n=129), wedi ei ddilyn ar-lein (25.9%, n=137) a theledu (24.4%, n=66), ac ar ei isaf ar y radio (22.4%, n=64). Fodd bynnag, yn y 73.6% (n=1,102) o'r sylw ar draws yr holl gyfryngau lle'r oedd cyfrifoldeb wedi ei gynnwys, Llywodraeth Cynulliad Cymru oedd yn ysgwyddo neu'n cymryd cyfrifoldeb amlaf (19.8% o eitemau newyddion, n=296), wedi ei ddilyn gan fuddiannau preifat/busnes (17.6%, n=264) ac yna Llywodraeth Genedlaethol

**Tabl 11:** Priodoliadau cyfrifoldeb am dlodi (fel % o eitemau newyddion).

| | Teledu | Radio | Print | Ar-lein | Pob cyfrwng |
|---|---|---|---|---|---|
| Dim cyfrifoldeb wedi ei gynnwys | 24.4% (n=66) | 22.4% (n=64) | 31.2% (n=129) | 25.9% (n=137) | 26.4% (n=396) |
| Polisi LlCC | 29.3% (n=79) | 24.8% (n=71) | 13.8% (n=57) | 16.9% (n=89) | 19.8% (n=296) |
| Buddiannau preifat/ busnes | 18.5% (n=50) | 18.2% (n=52) | 16.4% (n=68) | 17.8% (n=94) | 17.6% (n=264) |
| Polisi llywodraeth genedlaethol (presennol) | 9.6% (n=26) | 13.3% (n=38) | 19.8% (n=82) | 18.2% (n=96) | 16.2% (n=242) |
| Pleidleisio dros adael yr UE | 10% (n=27) | 9.4% (n=27) | 14.3% (n=59) | 17.8% (n=94) | 13.8% (n=207) |
| Polisi'r UE | 9.6% (n=26) | 9.1% (n=26) | 8% (n=33) | 6.6% (n=35) | 8% (n=120) |
| Polisi llywodraeth leol | 9.3% (n=25) | 9.4% (n=27) | 4.8% (n=20) | 7.6% (n=40) | 7.5% (n=112) |
| Polisi llywodraeth genedlaethol (gorffennol) | 4.1% (n=11) | 5.2% (n=15) | 8.7% (n=36) | 7.6% (n=40) | 6.8% (n=102) |
| Unigolion a effeithiwyd | 3.3% (n=9) | 2.8% (n=8) | 8.7% (n=36) | 6.6% (n=35) | 5.9% (n=88) |
| Arall | 4.8% (n=13) | 5.9% (n=17) | 4.8% (n=20) | 4.7% (n=25) | 5% (n=75) |
| Pleidleisio dros aros yn yr UE | 0.7% (n=2) | 0.3% (n=1) | 3.6% (n=15) | 3.6% (n=19) | 2.5% (n=37) |
| Cyfanswm | 123.7% (n=334) | 121% (n=346) | 134.1% (n=555) | 133.3% (n=704) | 129.4% (n=1,939) |

bresennol y DU (16.2%, n=242). Mae hyn yn ddiddorol, oherwydd er bod llawer o'r meysydd y gellir eu cysylltu ag atal neu leddfu tlodi, fel datblygu economaidd, lles cymdeithasol a thai, yn feysydd polisi wedi eu datganoli i Lywodraeth Cynulliad Cymru, mae meysydd polisi allweddol eraill sy'n rheoli neu'n effeithio ar dlodi, fel cyflogaeth a nawdd cymdeithasol a system dreth y DU yn dal yng ngrym y llywodraeth yn San Steffan. Roedd llawer llai o straeon yn rhoi'r cyfrifoldeb am dlodi ar lywodraeth leol, gyda rhai o'r rheiny a wnaeth yn canolbwyntio ar fynd i'r afael â digartrefedd neu ei reoli.

Roedd unigolion yn llawer llai tebygol na'r llywodraeth a sefydliadau eraill o gael eu gwneud yn gyfrifol am y materion tlodi oedd yn effeithio arnynt (5.9% o briodoliadau tlodi, n=88), er bod hyn ychydig yn fwy aml mewn print (8.7%, n=36) na mathau eraill o gyfryngau. Yn hyn o beth, gallwn weld nad oes llawer o dystiolaeth bod y math o naratif sy'n creu stigma am y rheiny sydd yn profi tlodi a nodwyd gan ymchwil flaenorol yn nodweddiadol o'r sylw yn adrannau allweddol o'r wasg genedlaethol yn y DU.

Yn ddiddorol iawn, roedd ymddygiad pleidleisio'r cyhoedd yn refferendwm yr UE hefyd yn arwyddocaol yn y ffordd yr oedd y cyfrifoldeb am dlodi'n cael ei nodi ar draws y sylw, gyda phobl a bleidleisiodd dros Brexit mewn sefyllfa fwy cadarn o ran cyfrifoldeb (13.8%, n=207) na'r rheiny a bleidleisiodd dros aros yn yr UE (2.5%, n=37). Yn gyffredinol, gwelir bod y canfyddiadau hyn yn cyfleu tôn foesol straeon am dlodi. Er eu bod yn llai aml yn gyffredinol, maent yn adlewyrchu'r data a gyflwynir uchod ar 'achosion tlodi' a nodwyd yn y sylw (gyda 14.6% (n=218) o'r sylw'n cynnwys gadael yr UE fel achos posibl tlodi, gyda dim ond 4.1% (n=62) o'r sylw'n nodi aros fel achos).

## Ymatebion i dlodi

Yn ogystal â'r 'cyfrifoldeb' a briodolir am dlodi a materion yn ymwneud â thlodi, archwiliwyd hefyd y sylw i 'ymatebion i dlodi' a gafodd eu cynnwys yn y sylw fel camau oedd y gellid neu y dylid eu cymryd. Awgrymwyd ymatebion o ryw fath yn y rhan fwyaf o'r eitemau newyddion yn ein sampl (90.4%, n=1,354). Roedd y rhain yn weddol eang ond yn canolbwyntio'n bennaf ar ymyrraeth lywodraethol ar lefelau Cynulliad Cymru (26.5%, n=397) neu Lywodraeth y DU (21.5%, n=322), yn ogystal ag ymgyrchoedd gwleidyddol dros newid oedd yn cael eu targedu ar y lefelau hynny o lywodraeth (18.4%, n=275) ac oedd yn ymwneud yn bennaf ag ymgyrchu cyn etholiadau Llywodraeth Cymru. Cafwyd pwyslais sylweddol hefyd ar yr ymatebion y gellid neu oedd yn cael eu gwneud gan fusnes (20.9%, n=313). Ni chanfuwyd llawer o bwyslais ar yr ymatebion a gymerwyd gan neu y disgwyliwyd gan unigolion (naratif fel 'gwellwch eich sefyllfa trwy eich ymdrechion eich hun'), gyda 'gweithredu unigol' yn rhoi cyfrif am 3.9% (n=59) yn unig o'r ymatebion oedd wedi eu codio. Yn yr un modd, nid oedd ymatebion cyfraith a threfn yn cael eu cynnig yn aml (5.9%, n=88) ac yn hytrach na chyfeirio at blismona'r rheiny oedd mewn tlodi, roedd y rheiny oedd

yn bodoli'n ymwneud yn bennaf â gweithredu i fynd i'r afael â sgamiau, atal twyllo pobl i gael eu cynilion neu herio caethwasiaeth fodern. Cafodd galwadau penodol am newidiadau i fudd-daliadau a/neu'r isafswm cyflog eu codio ar wahân, ac er bod cynyddu (2.5%, n=38) a thorri lefelau budd-dal lles (0.9%, n=14) wedi eu cynnig mewn erthyglau newyddion fel ymatebion i dlodi (gan adlewyrchu cynnwys safleoedd gwleidyddol/ideolegol gwahanol oedd wedi eu cynnwys yn yr adroddiadau), nid oedd y rhain yn ymddangos yn aml yn y sylw o'u cymharu â galwadau mwy cyffredinol am ymyriadau'r llywodraeth.

**Tabl 12:** Ymatebion i dlodi (fel % o'r eitemau newyddion).

| | **Teledu** | **Radio** | **Print** | **Ar-lein** | **Pob cyfrwng** |
|---|---|---|---|---|---|
| Ymyrraeth Llywodraeth Cynulliad Cymru | 30.7% (n=83) | 29.7% (n=85) | 23.4% (n=97) | 25% (n=132) | 26.5% (n=397) |
| Ymyrraeth Llywodraeth y DU | 23% (n=62) | 18.5% (n=53) | 27.3% (n=113) | 17.8% (n=94) | 21.5% (n=322) |
| Ymyrraeth breifat/busnes | 21.9% (n=59) | 14.3% (n=41) | 19.6% (n=81) | 25% (n=132) | 20.9% (n=313) |
| Ymgyrch gwleidyddol | 21.9% (n=59) | 20.6% (n=59) | 13.5% (n=60) | 18.4% (n=97) | 18.4% (n=275) |
| Prosiect elusennol | 3.3% (n=9) | 4.9% (n=14) | 13.8% (n=57) | 12.3% (n=65) | 9.7% (n=145) |
| Dim ymateb wedi ei gynnwys | 10.7% (n=29) | 13.6% (n=39) | 7.5% (n=31) | 8.5% (n=45) | 9.6% (n=144) |
| Pleidlais dros aros yn yr UE | 9.3% (n=25) | 11.5% (n=33) | 8.9% (n=37) | 9.1% (n=48) | 9.5% (n=143) |
| Ymyrraeth llywodraeth leol | 8.1% (n=22) | 7% (n=20) | 7.7% (n=32) | 10.6% (n=56) | 8.7% (n=130) |
| Arall | 4.8% (n=13) | 8% (n=23) | 6.3% (n=26) | 10.8% (n=57) | 7.9% (n=119) |
| Cyfraith a threfn | 5.6% (n=15) | 1.7% (n=5) | 9.9% (n=41) | 5.1% (n=27) | 5.9% (n=88) |
| Pleidlais dros adael yr UE | 6.3% (n=17) | 4.9% (n=14) | 5.3% (n=22) | 5.3% (n=28) | 5.4% (n=81) |
| Protest | 7.4% (n=20) | 3.1% (n=9) | 3.4% (n=14) | 6.6% (n=35) | 5.2% (n=78) |
| Gweithredu gan undeb | 6.7% (n=18) | 2.4% (n=7) | 6.3% (n=26) | 4.7% (n=25) | 5.1% (n=76) |
| Gweithredu gan unigolyn | 2.2% (n=6) | 0.7% (n=2) | 4.6% (n=19) | 6.1% (n=32) | 3.9% (n=59) |
| Cyfraniad elusennol | 0.4% (n=1) | 1.4% (n=4) | 3.4% (n=14) | 5.1% (n=27) | 3.1% (n=46) |

**Tabl 12:** *parh.*

| | Teledu | Radio | Print | Ar-lein | Pob cyfrwng |
|---|---|---|---|---|---|
| Cynyddu lefelau budd-dâl | 3% (n=8) | 3.1% (n=9) | 3.6% (n=15) | 1.1% (n=6) | 2.5% (n=38) |
| Celf a diwylliant | 1.1% (n=3) | 0.3% (n=1) | 1% (n=4) | 1.5% (n=8) | 1.1% (n=16) |
| Torri lefelau budd-dâl | 1.5% (n=4) | 0.7% (n=2) | 1.4% (n=6) | 0.4% (n=2) | 0.9% (n=14) |
| Cynyddu isafswm cyflog/cyflog byw | 0% (n=0) | 0% (n=0) | 1% (n=4) | 0.6% (n=3) | 0.5% (n=7) |
| Arall | 0.7% (n=2) | 0% (n=0) | 0% (n=0) | 0.2% (n=1) | 0.2% (n=3) |
| Cyfanswm | 168.5% (n=455) | 146.9% (n=420) | 168.8% (n=699) | 174.2% (n=920) | 166.5% (n=2,494) |

Yn y categori hwn, gwelsom eto fod Brexit yn weddol arwyddocaol, gyda'r canfyddiadau unwaith eto'n ategu'r data a gyflwynir uchod. Yma, mae pleidleisio dros 'aros' fel ymateb i lymhau neu fygwth ffordd o fyw yn ymddangos yn 9.5% o'r eitemau newyddion ar draws y cyfryngau (n=143), tra bod pleidleisio dros 'adael' yn ymddangos yn llai aml (5.4% o'r sylw, n=81).

Wrth edrych yn agosach ar sylw sydd yn nodi bod gan Lywodraeth Cymru gyfrifoldeb dros y materion tlodi sydd wedi eu cynnwys, rydym yn gweld nad yw'r materion hyn bob amser wedi eu cyfyngu i feysydd polisi sydd wedi eu datganoli i Lywodraeth Cymru ar hyn o bryd. Er y gallai pwerau Llywodraeth Cymru ei galluogi i leddfu unrhyw effeithiau posibl polisïau llesiant Llywodraeth y DU mewn ffyrdd amrywiol (er enghraifft trwy bolisïau wedi eu targedu mewn addysg neu iechyd), yn 2016 o leiaf, nid oedd gan Lywodraeth Cymru bwerau codi trethi arwyddocaol, nac i gyflwyno diwygiadau lles ar raddfa fawr nac i reoli gweinyddiaeth taliadau llesiant pwysig.[7] Fodd bynnag, gall teimlad o gyfrifoldeb Llywodraeth Cymru dros faterion tlodi y tu hwnt i gylch gorchwyl pwerau yng Nghymru gael eu cyfleu weithiau trwy adrodd, mewn ffyrdd amrywiol. Mewn rhai erthyglau, ymatebwyd yn aml i faterion oedd wedi eu cyfleu fel cyfrifoldeb llywodraeth genedlaethol y DU gan lefarwyr Llywodraeth Cymru, oedd yn ceisio amlygu ymyriadau strategol yng Nghymru. Er enghraifft, yn 'Galwad i Roi Tsar i Lan y Môr er Mwyn Brwydro yn Erbyn Dirywiad' (*Daily Post*, 11 Gorffennaf), rhoddir proffil i alwad Cymdeithas Lletygarwch Prydain (BHA) am ymyriadau cenedlaethol, yn cynnwys torri TAW ar gyfer twristiaeth. Ynghyd â galwad gan westywr o Landudno am wneud mwy 'i wleidyddion yng Nghaerdydd a San Steffan', dyfynnir llefarydd Llywodraeth Cymru:

> Rydym yn lwcus yng Nghymru bod gennym arfordir gwirioneddol ragorol gyda golygfeydd ac atyniadau heb eu tebyg ac rydym yn benderfynol o helpu ein cymunedau arfordirol i fanteisio i'r eithaf ar

> nodweddion naturiol eu hardaloedd, gwella eu potensial ac ysgogi twf a swyddi lleol. Mae ein cronfa cyfalaf Lleoedd Llewyrchus Llawn Addewid yn helpu llawer o drefi arfordirol ac yn gynharach yr wythnos hon, gwahoddwyd ceisiadau am Gronfa Cymunedau Arfordirol y Gronfa Loteri Fawr o £3.4m.

Heb unrhyw ymateb tebyg wedi ei gynnwys yn yr erthygl gan lefarydd o'r llywodraeth genedlaethol, gellir dadlau bod ffocws y cyfrifoldeb ynghylch pryderon BHA, 'i helpu trefi i 'frwydro nôl ar ôl degawdau o ddirywiad', wedi ei gyfeirio yn anghymesur tuag at Lywodraeth Cymru. Yn yr un modd, yn 'Nyrsys yn Sôn am Bryderon ynghylch Iechyd Cleifion' (*Western Mail*, 28 Mehefin), nodir arolwg ar draws y DU o safbwyntiau nyrsys a chynorthwywyr gofal iechyd y Coleg Nyrsio Brenhinol (RCN) o heriau gofal iechyd, gyda ffocws penodol ar ei arwyddocâd i Gymru. Dyfynnir Tina Donnelly, cyfarwyddwr RCN Cymru, sydd yn rhoi ei dadansoddiad hi o ganfyddiadau'r arolwg:

> Mae'r rheiny a arolygwyd yn dweud wrthym fod iechyd eu cleifion yn gwaethygu oherwydd anghydraddoldebau cymdeithasol fel tai gwael neu dlodi – materion annioddefol y byddem yn disgwyl iddynt gael eu trin yn fwy effeithiol yn y Brydain fodern … Mae'n rhaid i ni gryfhau'r agenda iechyd y cyhoedd trwy gynyddu cyllid yng Nghymru ar gyfer meysydd allweddol fel tai a budd-daliadau cymdeithasol i'r rheiny sydd yn wirioneddol mewn angen. Yn y pen draw, mae'n rhaid i ni sicrhau bod yr anghydraddoldebau sydd ar hyn o bryd yn rhannu'r rheiny ag iechyd da ac iechyd gwael yn rhywbeth o'r gorffennol er mwyn i bob aelod o'r cyhoedd gael yr un cyfleoedd o ran eu hiechyd a'u llesiant parhaus.

Gyda'r sylw yn gadarn ar ganlyniadau dymunol ac angen ar y cyd ('mae'n rhaid i ni …') fynd i'r afael ag anghydraddoldebau cymdeithasol, ac yn absenoldeb unrhyw sylwadau newyddiadurol, mae priodoli cyfrifoldeb am wireddu'r nodau hyn yng Nghymru yn mynd braidd yn gyffredinol.

Yn wir, nid yw'r llinellau terfyn rhwng pwerau Llywodraeth Cymru a llywodraeth genedlaethol y DU (ac felly syniad o bwy ddylai gael eu dwyn i gyfrif) bob amser yn amlwg mewn erthyglau. Mae'r ffiniau'n aneglur yn aml, yn bennaf o ganlyniad i ddewisiadau rhethreg gan wleidyddion a ddyfynnir yn yr eitemau newyddion sydd yn ceisio rhoi arwyddocâd i'w honiadau – nodwedd nad yw'n syndod cyn yr etholiad a phleidlais refferendwm yr UE, er enghraifft, ond sydd hefyd yn amlwg mewn meysydd eraill o'r sylw. Yng nghanol yr argyfwng oedd yn wynebu gweithwyr dur Port Talbot, mae prif weinidog Cymru, Carwyn Jones, yn pwysleisio ei rôl weithredol yn y trafodaethau a chytundeb posibl i Bort Talbot, yn 'Cynnig yr Argyfwng Dur yn Cael ei Groesawu Gan y Diwydiant a'r Undebau':

> Rydym wedi ymrwymo i gefnogi unrhyw gais credadwy i sicrhau gwneuthuriad dur yng Nghymru. Rydym wedi gweithio gyda Llywodraeth y DU i sefydlu'r pecyn arwyddocaol hwn o gymorth ac rydym ni o'r farn y bydd hyn yn helpu i sicrhau gwerthiant llwyddiannus gweithrediadau Tata Steel yng Nghymru a gweddill y DU. (*Dail Post*, 22 Ebrill)

Yma, mae'r 'ni' torfol unwaith eto yn cuddio deinameg y pŵer a'r cyfrifoldeb posibl am ragolygon y gwaith a bywoliaeth y gweithwyr a'u teuluoedd sy'n dibynnu arno.

Gall y cwestiwn ynghylch y graddau y gall Llywodraeth Cymru fynd i'r afael â thlodi yn effeithiol a chael effaith ar fywoliaeth trwy'r 'grymoedd' sydd ganddi yn dal yn fater polisi byw. Mae hefyd yn gwestiwn cymhleth iawn sydd yn anodd ei fesur a'i wahanu oddi wrth effaith bellgyrhaeddol polisïau yng Nghymru sydd wedi eu sefydlu gan lywodraeth genedlaethol y DU yn San Steffan. Mewn trafodaethau newyddiadurol, lle mae ffocws stori yn anaml yn un sydd yn *bennaf* yn mesur graddau'r cyfrifoldeb sy'n berthnasol i lefelau gwahanol y llywodraeth yn y system ddatganoledig, efallai nad yw'n syndod felly bod diffyg eglurder wrth gyfleu cyfrifoldeb am faterion yn ymwneud â thlodi. Eto, nid yw hyn yn golygu nad yw'n bwysig: er mwyn i newyddiaduraeth fynd i'r afael â'i rôl pedwaredd ystâd ar dlodi yn effeithiol yng Nghymru, gall fod yn hanfodol datblygu ffyrdd lle gall ei gymhlethdod gael ei ddeall yn fwy ystyrlon a chyfannol yn y drafodaeth gyhoeddus, gan gynnwys fframweithiau ar gyfer dirnad atebolrwydd gwleidyddol.

## Lleisiau ar dlodi

Yn olaf, archwiliwyd y mathau o bobl a ddyfynnwyd yn uniongyrchol neu'n anuniongyrchol fel ffynonellau ym mhob eitem newyddion. Cyfeiriwyd at ffynonellau yn y mwyafrif o eitemau newyddion yn ein sampl (93.1%, n=1,394). Cafodd yr holl ffynonellau a nodwyd ym mhob eitem newyddion eu cyfrif (n=4,323) gyda ffynonellau amrywiol yn ymddangos yn y mwyafrif o eitemau (63.2%, n=946).

Y categori mwyaf o ffynonellau oedd ffigurau neu bleidiau gwleidyddol (35.5% o ffynonellau, n=1,540), yna dinasyddion (18.9%, n=819) ac yna ffynonellau busnes (13.6%, n=587). Mae'n ymddangos bod ffynonellau cyfryngol hefyd yn weddol arwyddocaol yn ein sampl, ond mae hyn yn bennaf oherwydd y codio (codwyd sgyrsiau rhwng cyflwynwyr stiwdio a newyddiadurwyr fel ffynonellau hefyd). Er bod y tueddiadau hyn yn gyson ar draws y cyfryngau, yn benodol roedd ffynonellau gwleidyddol yn fwyaf cyffredin mewn newyddion print (44.9% o ffynonellau print, n=508), tra bod dinasyddion yn cael eu dyfynnu'n amlach o lawer mewn newyddion teledu (29.6% o ffynonellau teledu, n=229) na chyfryngau eraill. Yn yr un modd, ond ar raddfa lai, lleisiau busnes oedd

**Tabl 13:** Ffynonellau oedd wedi eu cynnwys yn y sylw (% o gyfanswm y ffynonellau).

| | Teledu | Radio | Print | Ar-lein | Pob cyfrwng |
|---|---|---|---|---|---|
| Ffynhonnell wleidyddol | 28.2% (n=285) | 32% (n=221) | 44.9% (n=508) | 35.3% (n=526) | 35.6% (n=1,540) |
| Dinasyddion arferol/preswylwyr | 29.6% (n=299) | 18.7% (n=129) | 11.1% (n=125) | 17.8% (n=266) | 18.9% (n=819) |
| Busnes | 9.8% (n=99) | 9.6% (n=66) | 13.2% (n=149) | 18.3% (n=273) | 13.6% (n=587) |
| Cyfryngau | 14.8% (n=149) | 13.7% (n=95) | 1.9% (n=22) | 3.6% (n=53) | 7.4% (n=319) |
| Trydydd sector | 2.7% (n=27) | 4.6% (n=32) | 8% (n=90) | 3.8% (n=56) | 4.7% (n=205) |
| Undeb | 4.1% (n=41) | 4.5% (n=31) | 4.8% (n=54) | 4.3% (n=64) | 4.4% (n=190) |
| Cyfraith a threfn | 0.9% (n=9) | 0.3% (n=2) | 5.7% (n=65) | 3.6% (n=54) | 3% (n=130) |
| Adroddiad | 1.7% (n=17) | 2.7% (n=19) | 3.3% (n=37) | 3.5% (n=52) | 2.9% (n=125) |
| Academaidd | 2.4% (n=24) | 4.6% (n=32) | 1.4% (n=16) | 3% (n=45) | 2.7% (n=117) |
| Addysg | 3.1% (n=31) | 3% (n=21) | 1% (n=11) | 3% (n=45) | 2.5% (n=108) |
| Iechyd | 1.2% (n=12) | 1.4% (n=10) | 1.9% (n=21) | 1.8% (n=27) | 1.6% (n=70) |
| Arall | 0.7% (n=7) | 1% (n=7) | 1.2% (n=14) | 1.1% (n=16) | 1% (n=44) |
| Pôl piniwn | 0.1% (n=1) | 0.6% (n=4) | 0.9% (n=10) | 0.6% (n=9) | 0.6% (n=24) |
| Ffigur/sefydliad crefyddol | 0.2% (n=2) | 0.7% (n=5) | 1.4% (n=5) | 0.2% (n=3) | 0.3% (n=15) |
| Amaethyddiaeth | 0.6% (n=6) | 0.6% (n=4) | 0.2% (n=2) | 0% (n=0) | 0.3% (n=12) |
| Ffynhonnell heb ei nodi | 0.1% (n=1) | 1% (n=13) | 0.2% (n=2) | 0.2% (n=2) | 0.3% (n=18) |
| Cyfanswm | 100% (n=1,010) | 100% (n=691) | 100% (n=1,131) | 100% (n=1,491) | 100% (n=4,323) |

fwyaf tebygol o gael eu gweld mewn newyddion ar-lein (18.3% o ffynonellau ar-lein, n=273) tra bod y trydydd sector yn fwy tebygol o gael ei ddyfynnu mewn print (8% o ffynonellau print, n=90) nag mewn cyfryngau eraill.

**Tabl 14:** Ffynonellau gwleidyddol (% o gyfanswm y ffynonellau).

| Ffynonellau gwleidyddol | Teledu | Radio | Print | Ar-lein | Pob cyfrwng |
|---|---|---|---|---|---|
| Gwleidydd cenedlaethol y DU | 7.1% (n=72) | 8.2% (n=57) | 18.3% (n=207) | 11.3% (n=169) | 11.7% (n=505) |
| Gwleidydd Llywodraeth Cynulliad Cymru | 10.9% (n=110) | 8.4% (n=58) | 13.1% (n=148) | 11.7% (n=174) | 11.3% (n=490) |
| Plaid wleidyddol | 7% (n=71) | 9.3% (n=64) | 6.9% (n=78) | 4.9% (n=73) | 6.6% (n=286) |
| Ffynhonnell wleidyddol: llywodraeth leol | 3.2% (n=32) | 3.8% (n=26) | 6% (n=68) | 6.8% (n=102) | 5.3% (n=228) |
| Ffynhonnell wleidyddol: rhyngwladol | 0% (n=0) | 2.3% (n=16) | 0.6% (n=7) | 0.5% (n=8) | 0.7% (n=31) |
| Cyfanswm y ffynonellau gwleidyddol | 28.2% (n=285) | 32% (n=221) | 44.9% (n=508) | 35.3% (n=526) | 35.6% (n=1,540) |

Pan fyddwn yn edrych yn agosach ar y ffynonellau gwleidyddol sydd wedi eu cynnwys, rydym yn gweld yn gyffredinol mai gwleidyddion cenedlaethol y DU sydd fwyaf tebygol o gael eu nodi. Fodd bynnag, yn hyn o beth, cafwyd ychydig o wahaniaeth rhwng newyddion print a newyddion ar y teledu, gyda newyddion print yn cynnwys gwleidyddion cenedlaethol y DU yn amlach na ffynonellau gwleidyddol eraill (18.3% o ffynonellau print, n=207), gyda newyddion ar y teledu yn cynnwys gwleidyddion Llywodraeth Cynulliad Cymru fwyaf aml (10.9% o ffynonellau teledu, n=110) yn yr un modd â newyddion ar-lein (11.7% o'r ffynonellau ar-lein, n=174) a'r radio oedd fwyaf tebygol o nodi 'pleidiau gwleidyddol' yn fwy cyffredinol (9.3% o ffynonellau radio, n=64). Roedd ffynonellau llywodraeth leol yn llai tebygol o ymddangos fel ffynonellau ar draws pob cyfrwng, er eu bod fwyaf tebygol o ymddangos ar-lein (6.8% o ffynonellau ar-lein, n=102) a lleiaf tebygol mewn newyddion ar y teledu (3.2% o ffynonellau ar y teledu, n=32).

Roedd dinasyddion arferol/preswylwyr yn amlwg fel categori o ffynonellau a nodwyd ar draws y mathau o newyddion, ond archwiliwyd hefyd yn fanylach pa ddinasyddion/preswylwyr oedd wedi eu cynnwys yn y categori hwnnw ac a oedd y bobl hyn wedi eu heffeithio'n amlwg neu fel arall gan y materion oedd yn gysylltiedig â thlodi yn y stori. Y categori mwyaf o ddinasyddion/preswylwyr a gynrychiolwyd fel ffynonellau oedd y rheiny nad ydynt wedi nodi'n benodol eu bod wedi cael eu heffeithio gan dlodi (6.7% o'r ffynonellau, n=291), a'r categori mwyaf nesaf oedd y rheiny a nododd yn gyffredinol eu bod yn ddinasyddion/preswylwyr sydd wedi eu heffeithio gan faterion tlodi mewn rhyw ffordd (4.1% o'r ffynonellau, n=176). Y categori arwyddocaol nesaf oedd gweithwyr sydd wedi eu heffeithio gan faterion tlodi (3.5% o'r ffynonellau, n=150), er bod gweithwyr yn fwy amlwg yn y newyddion ar y teledu (6.9% o'r ffynonellau,

**Tabl 15:** Dinasyddion arferol fel ffynonellau (% o gyfanswm y ffynonellau).

| Dinasyddion arferol/ preswylwyr | Teledu | Radio | Print | Ar-lein | Pob cyfrwng |
|---|---|---|---|---|---|
| Dinesydd arferol/ preswyliwr (arall) | 9.9% (n=100) | 5.1% (n=35) | 4.1% (n=46) | 7.4% (n=110) | 6.7% (n=291) |
| Dinesydd arferol/ preswyliwr – wedi ei effeithio | 5.8% (n=59) | 6.4% (n=44) | 3.4% (n=39) | 2.3% (n=34) | 4.1% (n=176) |
| Gweithiwr – wedi ei effeithio | 6.9% (n=70) | 2.6% (n=18) | 1.9% (n=22) | 2.7% (n=40) | 3.5% (n=150) |
| Ieuenctid – wedi eu heffeithio | 2.1% (n=21) | 0.9% (n=6) | 0.4% (n=4) | 2.1% (n=31) | 1.4% (n=62) |
| Rhiant (arall) – wedi ei effeithio | 1.3% (n=13) | 1.7% (n=12) | 0.4% (n=4) | 1.8% (n=27) | 1.3% (n=56) |
| Henoed – wedi eu heffeithio | 2.8% (n=28) | 1.6% (n=11) | 0.1% (n=1) | 0.7% (n=10) | 1.2% (n=50) |
| Rhiant sengl – wedi ei effeithio | 0.1% (n=1) | 0.1% (n=1) | 0.4% (n=4) | 0.3% (n=5) | 0.3% (n=11) |
| Arall heb ei nodi – wedi ei effeithio | 0.6% (n=6) | 0.1% (n=1) | 0% (n=0) | 0.3% (n=4) | 0.3% (n=11) |
| Person digartref | 0% (n=0) | 0% (n=0) | 0.1% (n=1) | 0.3% (n=5) | 0.1% (n=6) |
| Person â chefndir mudol – wedi ei effeithio | 0.1% (n=1) | 0.1% (n=1) | 0.4% (n=4) | 0% (n=0) | 0.1% (n=6) |
| Cyfanswm y dinasyddion arferol/preswylwyr | 29.6% (n=299) | 18.7% (n=129) | 11.1% (n=125) | 17.8% (n=266) | 18.9% (n=819) |

**Tabl 16:** Rhyw y ffynhonnell (% cyfanswm rhyw y ffynonellau a nodwyd).

| | Teledu | Radio | Print | Ar-lein | Pob cyfrwng |
|---|---|---|---|---|---|
| Gwrywaidd | 53.8% (n=543) | 52.4% (n=362) | 58.6% (n=663) | 56.8% (n=847) | 55.9% (n=2,415) |
| Benywaidd | 30.2% (n=305) | 26.2% (n=181) | 21.3% (n=241) | 22.9% (n=342) | 24.7% (n=1,069) |
| Rhyw heb ei nodi | 16.0% (n=162) | 21.4% (n=148) | 20.1% (n=227) | 20.3% (n=302) | 19.4% (n=839) |
| Cyfanswm y rhywiau a nodwyd | 100% (n=1,010) | 100% (n=691) | 100% (n=1,131) | 100% (n=1,491) | 100% (n=4,323) |

